# TRAETHODAU

AR Y

# DONIAU GWYRTHIOL,

A'R

# MIL BLYNYDDOEDD, &c.

---

"*Meddyliwch am eich blaenoriaid.*"—PAUL.

---

LLANELLI:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN THOMAS JONES.

1853.

# TRAETHODAU.

---

## Y DONIAU GWYRTHIOL, A'R MIL BLYNYDDOEDD.

[Allan o "Seren Gomer" am Ebrill, 1832.]

Mr. Gomer,—Os perais gymmaint o aflonyddwch i rai o'ch darllenwyr, trwy fy hysbysiad o'r athrawiaeth filflynyddol, beth fydd y cynhwrf a deimlant wrth yr hyn yr wyf yn ei ddadganu yn fy ysgrif bresennol? o herwydd yr wyf yn bwriadu haeru, gyda hyfder, y daliadau canlynol:—sef, bod yr holl ddoniau gwyrthiol a feddiannwyd gan y brif eglwys yn mhlith canlynwyr yr apostolion a'r efengylwyr, gymmaint yn etifeddiaeth i'r eglwys yn y dyddiau presennol ag yr oeddynt iddynt hwy yn y ganrif gyntaf, ac nad oes dim yn attal ond bychander ffydd yn unig, i'r eglwys wneuthur gwyrthiau y dydd hwn gyda'r un mesur o nerth ac awdurdod ag y gweithiodd yn ei hoes gynnaraf.

Yn awr, meddyliaf y gwelaf ryw un yn ymswyn rhagof, ac yn dywedyd,—"Beth yw'r ynfydrwydd hyn? Onid yw oes gwyrthiau gwedi myned heibio?" Ond atebaf y cyfryw trwy ofyniad arall,—Pa bryd y terfynodd yr oes hono? A pha bryd y tynodd Duw ymaith ei fraint-ysgrif oddiwrth ei eglwys? Atebed neb y gofyniad hyn, a myfi a ymrwymaf i wadu y cyfan a ysgrifenais, ac i wneuthur penyd am dano. Eithr yn hytrach y gwirionedd yw, fod Penaeth mawr yr eglwys gwedi rhoddi iddi fraint-ysgrif trwy ba un y cynnysgaethodd hi â doniau gwyrthiol, ac ni thynodd erioed mo honi ymaith trwy un weithred ganlynol, ac nid oes dim ond anghrediniaeth yn attal cyflawn arferiad o'r holl ddoniau gogoneddus hyn. Er prawf, ein Harglwydd Iesu Grist, wrth ymadael â'i ddyscyblion ar ei esgyniad i'r nefoedd, a ddywedodd, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur, y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo a gondemnir. A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant:

yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid; ac â thafodau newyddion y llefarant; seirff a godant ymaith; ac os yfant ddim marwol, ni wna iddynt ddim niwed; ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy a fyddant iach." Marc xvi, 15, &c. Yn awr, pa le y mae y gwahaniad rhwng yr addewid o gadwedigaeth trwy ffydd a'r addewid o ddoniau gwyrthiol? a pha le mae yr awdurdod i ddywedyd fod y diweddaf i derfynu yn yr eglwys o flaen y y cyntaf? Ond yn y gwrthwyneb, pan mae yr un amgylchiad yn cael ei fynegi yn Math. xxviii, 18, &c., sonir am yr un gallu, a'i barhad trwy oes y byd, gan ddywedyd, "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear; ac wele, yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."

Yr oedd y doniau hyn yn ymddangos yn mhlith y prif Gristionogion mewn modd llewyrchus, fel yr oedd yr ysbryd yn rhanu i bob un o'r neilldu, er adeiladaeth yr eglwys, megys y gwelir yn 1 Cor. xii, "Canys i un trwy yr Ysbryd y rhoddir ymadrodd doethineb,—ac i arall ymadrodd gwybodaeth,—ac i arall ffydd,—ddawn i iachâu,—wneuthur gwyrthiau,—brophwydoliaeth,—wahaniaeth ysbrydoedd,—amryw dafodau,—gyfieithad tafodau." Bod y doniau hyn yn hanfodi yn yr eglwys yn y ganrif gyntaf, nid oes neb o Gristionogion yn ceisio ammeu. Ac y mae pawb hefyd yn barod i gyfaddef eu parhad trwy ystod yr eilfed ganrif. Y mae hefyd awdurdod hanesiol eu bod hwy yn cael eu harferyd yn y drydedd ganrif, ac hyd y nod yn y bedwaredd ganrif; ac y mae rhai yn credu y gallant eu holrhain yn mhlith credinwyr mor bell i lawr â'r seithfed ganrif; ond eu bod yno trwy anghrediniaeth, bydolrwydd, a llygredigaeth Pabyddiaeth, gwedi llesgâu a'u tywyllu i'r fath raddau, nad yw hawdd idd eu rhanu oddiwrth gau wyrthiau eglwys Rhufain. Ond gofynaf etto, Pa bryd y pallodd y doniau gwyrthiol? Os anaml yr ymddangosasant yn y dyddiau diweddar o lygredigaeth crefydd a gwendid ffydd, beth am hyny? Onid yw yr amgylchiad yn gysson ag ymddygiad Duw tuag at ei bobl dan yr oruchwyliaeth Iuddewig. Yn yr amser cyn galwad Samuel, "Gair yr Arglwydd oedd werthfawr yn y dyddiau hyny; nid oedd weledigaeth eglur." Ac ar ol hyny, yr Arglwydd ni atebai i Saul, "na thrwy freuddwydion, na thrwy Urim, na thrwy brophwydi." A thebygol yw, fod prinder mawr o weithrediadau gwyrthiol yn yr eglwys Iuddewig yn yr oesoedd nesaf cyn geni Crist. Felly, os blinwyd yr Ysbryd, a

pheiu anamlhau ei eglurhadau dan draws-lywodraeth eglwys Rhufain, ac yn y dyddiau diweddar, o egwander ffydd, ac o anghrediniaeth, pa ryfeddod yw?

Eithr rhai a haerant ei fod gwedi ei benderfynu y byddai i'r doniau hyn gael eu dileu trwy weithred awdurdodol; ac i'r dyben i brofi hyn adroddant 1 Cor. xiii, 8, 9,—"Pa un bynag ai prophwydoliaethau, hwy a ballant, ai tafodau, hwy a beidiant, ai gwybodaeth, hi a ddiflana. Canys o ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo;" ac yna bloeddiant, "Buddugoliaeth." Yn awr, yr wyf mor barod â hwy i gyfaddef y bydd i'r pethau hyn ballu,—ond pa bryd? gadewch i'r adnod ganlynol ddangos:—"Eithr pan ddelo yr hyn sydd berffaith [*otan de elthê to teleion*], yna yr hyn sydd o ran a ddileir." Nid oes neb a ddywed fod yr hyn sydd berffaith, y TO TEΛEION, eisoes wedi dyfod, oblegid "gweled yr ydym yr awrhon trwy ddrych, mewn dammeg;" ond pan ddel, yna ni a welwn "wyneb yn wyneb." Y mae yn ddiammheuol mai yr hyn sydd berffaith yw teyrnasiad personol Crist ar y ddaear, yn ei ail-ddyfodiad, pan y gwelwn wyneb yn wyneb; ac hyd nes y delo yr amser gwynfydedig hyn o adferiad pob peth, ac o sefydliad y deyrnas filflynyddol, y mae y doniau ysbrydol i barhau yn etifeddiaeth i'r eglwys, yn gystal â phob gweithrediad addawedig o eiddo yr Ysbryd Glân; ac yna ni bydd achos wrthynt mwyach, o herwydd ffydd a derfyna mewn gweslediad, a gobaith mewn mwynhad.

Os felly ydyw, ynte, os oes gan yr eglwys y fath hawl i'r doniau hyn, paham nad yw hi yn eu meddiannu? Atebaf,—O herwydd nad yw hi ddim yn eu ceisio; ïe, yn mhlith yr holl gynnullfaoedd ag sydd yn myned dan yr enw eglwysi, pa rai sydd yn gweddio am ddoniau gwyrthiol? ac os nad ydynt yn eu ceisio, ond yn hytrach yn ei farnu yn goelgrefyddol i weddio am danynt, a ydyw yn beth rhyfedd eu bod yn amddifad o honynt? Eithr beth mae yr ysgrythyr yn ei ddywedyd? "Deisyfwch ddoniau ysbrydol; ond yn hytrach fel y prophwydoch." 1 Cor. xiv, 1; ac hefyd,—"Deisyfwch y doniau goreu." Yn awr, pa fodd y gall neb, yn eu galw eu hunain yn Gristionogion, ddiystyru gair Duw gymmaint â gosod ar y neilldu orchymyn mor eglur â'r un uchod? A chan ys pa fodd y derbynier fy marn gan eich darllenwyr, yr wyf yn haeru nad oes un eglwys neu enw o grefyddwyr yn gywir mewn athrawiaeth, os nad yw yn arddel ei hawl

ddoniau ysbrydol, nac yn iawn mewn arferion, os nad yw yn gweddio am danynt, sef yr amrywiol ddoniau uwch-naturiol a enwir yn 1 Cor. xii.

Unwaith etto clywaf y "paham?" yn cael ymadroddiad. Paham na welwn y doniau hyn yn ymddangos yn rhyw un neu gilydd? ac yn benodol yn yr ysgrifenydd, yr hwn sydd yn dadleu mor hyderus dros eu hanfodiad? Atebaf, pe byddai genyf ffydd mor gadarn â gallu eu derbyn, a santeiddrwydd buchedd mor bur â dysgwyl am eu derbyniad; etto, meddyliaf mai nid er boddhau dymuniad rhyw un credadyn, yn ei unigol gais ei hun, y cyfrenir yr amrywiol ddoniau hyn, eithr er adeiladaeth i'r eglwys megys corff, canys felly yr amlygir yn y penodau a gyfeiriwyd atynt uchod. Ac megys y dywedais gynt ei fod yn annichonadwy deall yr ysgrythyrau, heb dderbyn yr athrawiaeth filflynyddol; felly yr ydwyf yn awr yn haeru fod rhan fawr o'r Testament Newydd yn anmherthynasol i gyflwr yr eglwys yn y dyddiau presennol, oddieithr fod y doniau ysbrydol yn addawedig iddi trwy bob oes o'i hanfodiad milwriaethol, yn ystod yr oruchwyliaeth hon; oblegid nid yn unig trwy ambell ymadrodd yma ac acw y cyfeirir at y pethau hyn, ond y mae amryw ranau helaeth o ysgrifeniadau yr apostolion yn cyfeirio at arferiad a choleddiad o'r doniau gwyrthiol, a'r rhanau hyny hefyd gwedi eu cymmysgu mor hollol ag athrawiaethau egwyddorol ac anghyfnewidiol yr efengyl, fel nas gwn pa fodd y gall neb gymmeryd arno eu gwahanu, neu ddywedyd fod iddo awdurdod i wrthod un gyfran, pan fyddo yn derbyn y nall. C.

## DONIAU GWYRTHIOL.

[Allan o "Seren Gomer" am Awst, 1832.]

Mr. Gomer,—Pan aufonais atoch fy sylwadau ar y Doniau Gwyrthiol, nid oeddwn yn dysgwyl y caent eu derbyn gan bawb yn ddiattreg, oblegid fy mod yn hysbys mor lliosog yw rhifedi y sawl ydynt naill ai yn diystyru y cyfryw ddoniau yn hollol, neu ynte, megys eich gohebydd Omicron, yn gwadu eu hanfodiad yn y dyddiau presennol. Ond gan fod gwrthddywediad eich cyfaill yn gofyn am ryw ateb oddiwrthyf, brysiaf at y gorchwyl.

Yn y man cyntaf, ynte, meddyliaf na all neb wadu yn hollol hanfodiad gweithrediad gwyrthiol yn y dyddiau presennol, heb ar yr un pryd gyhuddo arferion coel-grefyddol pob enw o Gristionogion ar wyneb y ddaear; ac annichonadwy yw i neb gydffurfio ag arferion Cristionogion yn gyffredinol, heb hefyd arddel hanfodiad offeryniaeth gwyrthiol. I brofi hyn, gofynaf, A oes un blaid o Gristionogion nad ydyw yn arddel ac yn arferyd y ddyledswydd o weddio am wellhad y claf? Ië, pan byddo clefyd wedi cerdded i'r fath raddau, a bod adferiad i iechyd yn beth tu hwnt i bob gobaith dynol, yn ol dim ag a ellir ei ddysgwyl oddiwrth neb rhyw foddion meddygol, oni welwn yn fynych ei gyfeillion Cristionogol yn gweddio dros y claf, ac yn taer erfyn ar i Dduw attal ei law, ac adferyd y cyfryw un idd ei arferol iechyd? Os atebwyd y fath weddi erioed, pa beth y galwn hyny ond gweithrediad gwyrthiol? Os credir fod atebiad yn ddichonadwy, pa beth yw hyny ond arddeliad o weithrediad gwyrthiol? Ond os na chredir yn y fath effeithiau, paham y gwatworir Duw trwy weddio mor ddibaid dros y claf mewn cynnifer o gynnulleidfaoedd a theuluoedd? Hefyd, pan fyddo amgylchiadau yn gofyn, oni osodir i fyny weddiau am wlaw, am dywydd teg, ac am waredigaeth oddiwrth newyn, haint, rhyfel, &c.? Y mae yr arferion hyn yn tystiolaethu fod yn mhlith Cristionogion etto ryw goffadwriaeth am atebiad gwyrthiol idd eu gweddiau, wedi ei gadw heb lwyr ddiflanu, er fod y doniau ereill yn yr un cofrestr yn cael eu gwadu yn hollol.

Dywed Omicron, nad oes achos mwyach am Ddoniau Gwyrth-

iol, gan fod y ffydd Gristionogol yn awr wedi ei "sefydlu yn y byd." Eithr gofynaf iddo, Yn mha gŵr o'r byd y mae y cyflwr gwynfydedig hwn idd ei weled? Cymmered ddarlunlen, a dangosed. Meddyliaf, y gwelaf ef yn taflu ei olygon dros ynysoedd a chyfandiroedd, ac o'r diwedd yn gosod pen ei fys ar Brydain Fawr, a rhyw gyrau bychain o'r cyffelyb yn yr ardaloedd gorllewinol. Ond, os ydyw yr efengyl wedi ei sefydlu mor gadarn yn Mhrydain, a llefydd ereill, fel nad oes achos mwyach wrth arwyddion gwyrthiol, beth yw yr ystyr fod ei phregethwyr yn cynnal y fath alar am anghrediniaeth ac anfoesoldeb? Eithr, gadawn i hyn orphwys lle y mae, ac awn at y rhanau ereill o'r ddarlunlen helaeth, ac edrychwn am sefydliad yr efengyl yn y byd; cymmerwn yn gyntaf ar gyfandir Affrica. Pa le mae sefydliad Cristionogaeth yno? Onid oes gan y pregethwr cenadawl yn Affrica gymmaint o anghen am arwyddion gwyrthiol ag oedd gan y cenadon cyssefin yn yr oes gyntaf? Edrychwn hefyd ar India Ddwyreiniol, ac amherodraeth China, ac ynysoedd môr y dehau. Pe bai yr holl ddarlunlen yn cael eu duo, oddieithr y manau hyny lle mae Cristionogaeth yn blaguro, meddyliaf mai bychain iawn yr ymddangosai y nodau gwynion. A hyn a elwir yn "sefydliad yr efengyl yn y byd!" Ond nid dyma yr unig gamsynied a hadfoda o eisieu galw pethau ar eu henwau iawn.

Dywed O. yn mhellach, mai er profion yn unig y rhoddwyd y doniau gwyrthiol, er troedigaeth anghredinwyr. Cyfaddefaf fod hyn yn mhlith eu dybenion mewn rhai amgylchiadau, eithr nid bob amser neu yn ddioddieithr, megys yr arwyddocâ eich cyfaill O.; eithr yn y gwrthwyneb, yr oeddynt fynychaf yn cael eu harferyd yn yr eglwys, pan nad oedd neb ond credinwyr yn gyd-ddrychol. A phan ystyria O. hanes arferiad y doniau fel y traddodir ef yn yr ysgrythyr, meddyliaf y newidia ei farn am eu dybenion, oblegid y mae Sant Paul yn dywedyd, 1 Cor. xiv, 22, "Am hyny tafodau ydynt arwydd, nid i'r rhai sydd yn credu, ond i'r rhai digred: eithr prophwydoliaeth, nid i'r rhai digred, ond i'r rhai sydd yn credu." Ac ni sonir am gyd-ddrychioldeb anghredinwyr, ond megys dygwyddiad anmherthynasol i arferiad y dawn o brophwydo. Pe byddai i ddynion ystyried yn fwy manwl y bennod hon, a'r ddwy ragflaenol, ni fyddai cymmaint o gamsynied mewn perthynas i'r doniau gwyrthiol; o herwydd ceid gweled mai er adeiladaeth i'r eglwys y rhoddwyd hwynt, ac nid yn unig er

troedigaeth anghredinwyr; ac hefyd fe ellir profi eu bod yn cael eu harferyd gan gredinwyr unigol, heb bresennoldeb neb ereill, megys y canfyddir yn y gorchymyn i'r neb a lefarai â thafod dyeithr, lle y dywedir, "Eithr oni bydd cyfieithydd, tawed yn yr eglwys; eithr llefared wrtho ei hun, ac wrth Dduw.

Dywed O. yn mhellach etto, os yw gwyrthiau yn perthyn i'r eglwys yn yr oes hon, onid yw yn rhyfedd fod Duw wedi ei difreinio o honynt dros gynnifer o oesoedd? Atebaf hyn trwy ofyniad arall. Onid rhyfedd yw, fod Duw wedi caniatâu dros gynnifer o oesoedd i un rhan o'r byd Cristionogol gael ei dywyllu gan Babyddiaeth, y rhan arall gan goel-grefydd eglwys Groeg, a'r drydedd ran gan Fahometaniaeth? Edryched O. ar gyflwr y byd yn yr oesoedd cyn ymddangosiad Luther, a myneged yn mha gŵr o hono yr oedd Eglwys Crist yn hanfodi, a pheth oedd ei chyflwr yno; ac os ydoedd gwirioneddau yr efengyl wedi eu herlid i'r diffaethwch dros gynnifer o ganrifau, pa ryfeddod yw fod y doniau gwyrthiol wedi cilio o'r golwg hefyd.

Gofyna hefyd, Paham nad adferwyd hwy i'r eglwys gyda'r diwygiad? Atebaf, oblegid nad oedd yr eglwys megys corff ddim yn eu ceisio. "Ceisiwch, a chwi a gewch," yw yr addewid; ac er mor dduwiol gwŷr oedd Doddridge, ac ereill, y sawl a grybwylla efe am danynt, ni ymddengys eu bod hwy na'u cynnulleidfaoedd yn ceisio y doniau ysbrydol, nac yn synwyrawl o'u hawl iddynt; eithr, credaf yn ddilys, pe buasent hwy, megys corff o gredinwyr, yn eu ceisio, y buasent yn eu derbyn; a chredaf hefyd fod yr un fraint yn addawedig i bob cynnulleidfa Gristionogol hyd y dydd heddyw; oddieithr hyn, y mae rhan fawr o'r ysgrythyr nad yw o un perthynas i ni yn yr oesoedd presennol.

Haera O. nad oes un prawf fod y doniau gwyrthiol yn hanfodi yn yr ail ganrif. Pe buasai yn cymmeryd mewn llaw y llafurwaith o chwilio drosto ei hun, yn lle ail-adrodd honiadau dynion ereill, meddyliaf y buasai yn pwyllo ychydig cyn rhoddi lle i'r fath haeriad yn ei ysgrifen, ac er cynllun, rhoddaf yma ychydig brofion o blith amryw o'r un cyffelyb, er dangos ei gamsynied.

Justin Martyr, yr hwn a fu farw A.D. 165, a ddywed fel y canlyn: —*Para gar êmin cai mechri nun prophêtica charismata estin*, &c. "Y mae y doniau prophwydol yn parhau gyda ni hyd yn awr, oddiwrth ba beth y dylech chwi, [yr Iuddewon,] ddeall eu bod

hwy y rhai oeddynt gynt yn eich cenedl chwi, wedi eu trosglwyddo i ni;" ac hefyd, "y mae idd eu gweled yn ein plith fenywaid a gwrrywaid â chanddynt ddoniau oddiwrth Ysbryd Duw." Hefyd,

Irenæus, yr hwn a fu farw A.D. 206, a sonia am fwrw allan gythreuliaid, a dywed, "Ereill a feddiannant ragwybodaeth o bethau i ddyfod, a gweledigaethau ac ymadroddion prophwydol. Ereill, trwy osodiad dwylaw, a iachânt y cleifion, ac a'u hadsefydlant yn iach; hefyd, y meirw a gyfodwyd, ac a arosasant gyda ni amryw flynyddoedd." Sonia hefyd am rai yn llefaru â thafodau dyeithr. Etto,

Tertullian, [o gylch A.D. 208,] a grybwylla am awdurdod gwyrthiol y Cristionogion, gan ddywedyd, "Cynnifer o ddynion cyfrifol, heb son am y werin, a gawsant ryddhad oddiwrth gythreuliaid a chlefydau." A dywed, y bu hyd y nod i'r amherawdwr Seferus dderbyn iachâd gwyrthiol trwy law Cristion. Mor amlwg oedd y gweithredoedd hyn yn y byd.

Ac am Origen, yr unig hen awdwr am ba un y crybwylla O., ac ar awdurdod pa un y ceisia daflu ammheuaeth, y mae ei dystiolaeth mewn amryw fanau, o blaid hanfodiad y doniau gwyrthiol, mor gadarn a phenderfynol, fel nas gallaf lai nâ rhyfeddu wrth weled y fath haeriad yn ysgrif eich cyfaill.

Origen, [bu farw A.D. 254,] a ddywed fel y canlyn, *Emeis gar*, &c. "A ninnau a allwn ddangos y nifer annhraethadwy o Roegwyr a Barbariaid yn cyfaddef yr Iesu, rhai o ba gyfryw a ddangosant yn y sawl a iachant, eu bod wedi derbyn trwy eu ffydd allu rhyfeddol, gan alw yn unig dros y rhai claf, y Duw Hollalluog, ac enw yr Iesu, yn nghyd a'i hanes. Oblegid trwy y pethau hyn ni a welsom lawer wedi eu rhyddhau oddiwrth glefydau trymion, ac ynfydrwydd a gwallgofrwydd, a myrddiynau o glefydau ereill y sawl ni fedrai dynion na chythreuliaid eu hiachâu."

Y mae hefyd, yr un fath o dystiolaeth yn cael ei rhoddi gan Cyprian, [A.D. 258,] Lactantius, [o gylch A.D. 316,] ac Arnobius, [A.D. 327,] a llaweroedd ereill, y sawl ydynt yn gadarn o blaid hanfodiad gwyrthiau; yn mhlith pa rai y mae Socrates yn haeddu coffadwriaath, gan ei fod yn dwyn tystiolaeth mor eglur i awdurdod ac arferiad y Cristionogion i wneuthur gwyrthiau, gan iachâu clefydau, a bwrw allan gythreuliaid, &c.

Ysgatfydd, fod rhai mor anneallus ag hysbysu eu dibrisdod am

lyfrau yr awduron uchod a'u bath, gan eo difrio megys gweithredoodd diwerth; eithr, hyderwn bethau gwell am eich gohebydd O., gan gredu ei fod yn fwy cynnefin â'u teilyngdod hanesol. Ond, rhag i neb o'ch darllenwyr syrthio i'r fath gamsyniad, deisyfaf arnynt bwyllo ychydig cyn penderfynu gwrthod eu tystiolaeth; oblegid, os gwrthodwch awdurdod hanesyddol y gwŷr uchod, a'u cyffelyb, pa le mae eu profion am ysbrydoliaeth a thraddodiad dilwgr yr Ysgrythyrau Santaidd? Os cyfaddefir genym fod y tadau uchod yn eirwir, ac haeddiannol o gred yn eu tystiolaeth am ysbrydoliaeth yr Ysgrythyrau, meddyliaf nas gallwn attal ein cred iddynt am yr amgylchiadau ereill, pa rai a draddodant i ni. Y mae mwy yn pwyso ar eirwirdra y tadau nac y mae hanner y byd Cristionogol yn ei syniaw; ac y mae llaweroedd yn honi yn gadarn am ysbrydoliaeth yr Ysgrythyrau, heb wybod ond ychydig am y graddau hanesyddol trwy pa rai y delir i wybodaeth a phrawf o hono.

Mewn perthynas i sylwadau Jortin, y sawl a ail-adroddir gan O., nid ydynt ronyn gwell nag eiddo Gibbon, ac anghredinwyr ereill. Yr unig wahaniaeth a welaf yw, bod Gibbon yn elyn agored, a bod Jortin, &c., dan rith gwasanaethu Cristionogaeth, yn bradychu yr achos, yn hyn, i ddwylaw yr anghredinwyr. Pe buasai i Gristionogion yn gyffredinol ymwroli i amddiffyn eu hawl i'r doniau ysbrydol, yn lle cywilyddio o'u plegid a'u diarddelu, buasai ergydion gwenwynig Gibbon, ac ereill, yn syrthio i'r llawr yn ddieffaith; ond yn hytrach nâ hyny, y maent yn cynnorthwyo eu hymdrechiadau, ac yn chwanegu nerth ac awch at yr hyn oedd eisoes yn rhy effeithiol. Ond, hyderaf, os bydd i neb yn bwyllus ac yn ddiragfarn ystyried y ddadl, y daw i'r penderfyniad nad ydyw y fraint-ysgrif o'r doniau ysbrydol ddim wedi ei dileu, ond eu bod y dydd heddyw, yn gystal ag erioed, yn atebol am ufyddhâd i'r gorchymyn, "Deisyfwch ddoniau ysbrydol; ond yn hytrach fel y prophwydoch."

Yr eiddoch,

C.

## BARN AZARIAH SHADRACH AM ADFERIAD EGLWYS CRIST.

YR oedd Zorobabel yn gysgod o Grist, Zech. iv, 9. Yn

1. Yr oedd Zorobabel wedi ei ddewis a'i apwyntio gan Dduw i arwain Israel o Babilon i Ganaan: felly mae Crist wedi cael ei apwyntio i ddwyn y Saint yn ol o bob crwydriadau, eu gwaredu o bob caethiwed, a'u harwain i'r Ganaan nefol.

2. Fe adeiladodd Zorobabel yr ail deml yn Jerusalem; ei ddwylaw ef a'i sylfaenodd, a'i ddwylaw ef a'i gorphenodd: felly fe adeilada Crist ei eglwys, ac fe fydd yn sicr o ddwyn yr holl adeilad i ben, er mai trwy foddion gwael, a llawer o wrthwynebiadau. Yr oedd yr ail deml hefyd yn bortread neillduol o adferiad crefydd a'r eglwys yn y mil blynyddoedd yn ol y cynllun apostolaidd.

1. Fe gafodd y deml gyntaf ei llychwino, a'i thynu i lawr hefyd gan y Babiloniaid: felly fe gafodd y cynllun apostolaidd o grefydd ei lychwino gan y Pabyddion.

2. Fe gafodd yr ail deml ei hadeiladu mewn amseroedd blinion: felly, mewn amseroedd blinion, y caiff yr eglwys ei hadferyd i'r cynllun apostolaidd.

3. Fe gafodd yr ail deml ei hadeiladu gan y rhai a fuont yn hir iawn yn y caethiwed: felly fe gaiff yr eglwys ei hadferyd yn ol i'r cynllun apostolaidd gan y rhai a fu yn hir mewn caethiwed o ddynol ddychymmygion, a dynol draddodiadau.

4. Yr oedd gan y rhai ag oeddynt yn adeiladu yr ail deml lawer o sorod i symud oddiar y ffordd: felly, fe fydd yn rhaid symud llawer o goel-grefyddau a gweddill Pabyddiaeth, a dynol ddychymmygion, oddiar y ffordd, cyn yr adferir yr eglwys i gynllun yr eglwys apostolaidd.

5. Dynion tlodion a diystyrllyd yn ngolwg llawer o ddynion oedd y rhai oeddynt yn adeiladu yr ail deml: felly y bydd hi etto wrth adferyd crefydd i'r cynllun apostolaidd.

6. Yr oedd llawer o ddynion yn farwaidd a difater iawn yn nghylch adeiladu yr ail deml, gan ddywedyd, "Ni ddaeth yr amser etto:" felly y mae llawer etto yn nghylch adeiladu yr eglwys a'i hadferyd yn ol i'r cynllun apostolaidd.

7. Yr oedd llawer o wawdio ar y rhai hyny ag oeddynt yn adeiladu yr ail deml: felly, y mae llawer o wawdio ar y rhai sydd am adferyd yr eglwys i'r cynllun apostolaidd.

8. Er fod llawer am rwystro Israel y pryd hyny i adeiladu yr ail deml: etto yn mlaen yr aeth y gwaith, er iddo gael ei rwystro dros ychydig.

9. Nid trwy sail na gallu dynol yr aeth yr ail deml yn y blaen; ond trwy Ysbryd y Duw byw: felly yr un modd yr adferir yr eglwys i'r cynllun apostolaidd. Duw a brysuro y boreu pan elo Seion yn ben moliant ar y ddaear. A dyweded yr holl bobl Amen.

## BARN JOHN WESLEY AM Y DONIAU YSBRYDOL.

NID ymddengys fod doniau goruwch naturiol wedi parhau yn gyffredin yn yr eglwys, ond hyd yr ail neu y drydydd ganrif. Anfynych y clywwn am danynt ar ol y cyfnod andwyol hwnw, pan y galwodd yr amherawdwr Cystenyn ei hun yn gristion, a thrwy ei fympwy hunanol iddo feddwl lledaenu Cristionogaeth drwy bentyru cyfoeth, anrhydedd, a nerth ar y Cristionogion yn gyffredinol. O'r amser hyn darfyddasant braidd yn hollol; o leiaf, pur anfynych y clywir am danynt wedi y pryd hyn. Nid yr achos iddynt ballu oedd, fel y dywed y cyffredin, am nad oedd eu heisieu mwyach, o herwydd fod yr holl fyd wedi cofleidio Cristionogaeth. Mae hyn yn gamsyniad truenus! Nid oedd yr ugeinfed ran o'r byd yn Gristionogion pryd hyny, hyd y nod mewn enw. Y gwir achos [na buasai y doniau gwyrthiol yn parhau] yw o herwydd oeri o gariad llawer—ni feddai y Cristionogion fwy o Ysbryd Crist nag oedd gan y paganiaid ereill! Mab y Dyn, pan ymwelodd â'i eglwys, ni allodd braidd gael ffydd ar y ddaear. Dyma yr achos gwreiddiol na chafwyd doniau goruwch naturiol yr Ysbryd Glân yn hwy yn yr eglwys Gristionogol, o herwydd ddarfod i'r Cristionogion droi yn baganiaid wedy'n, heb ond y llythyren farw yn unig yn ngweddill.



J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR.